# Y GARREG WEN.

CYCHWYNNODD tri o Gricieth ar fore hyfryd ym mis Awst diweddaf i weled cartref Dafydd y Garreg Wen, ac un o'r tri hynny sy'n ysgrifennu yr hanes di-addurn ond cywir hwn.

Yr oeddym yn tybied, er i ni weled llawer bau tlws, na welsom ddim tlysach erioed na Bau Cricieth y diwrnod hwnnw. Yr oedd y môr diderfyn o'n blaen, ac yr oedd y glesni hwnnw arnom na welsom yn unlle ond ar draethell Môr y Canoldir, dan gysgod mynyddoedd Liguria. Ar un ochr iddo yr oedd bryniau Meirion, fel llinell euraidd rhy dyner i ddisgleirio. O'n blaen ymgodai Moel y Gest fel caer anferth, a gwelem y ffordd hir yn dirwyn hyd yr ochr tuag ati. O'n hol safai castell Cricieth, yn hyf fel pan y canai Iolo Goch iddo, ond heb ogoniant ac heb oleuni mwy. Ar ein chwith yr oedd pigau mynyddoedd gleision yn codi ac yn colli o'n golwg gyda phob codi a gostwng yn y ffordd. Ar ein llaw dde yr oedd y môr, ac adlewyrch haul ar grib bob ton, yn gwneyd i ni feddwl am fyddin Sennacherib,—

"A phigau picellau fel ser ar y lli
Pan dywynno yr haul ar las ddwr Galili."

Anadlai gwynt braf o'r Wyddfa arnom wrth i ni deithio ymlaen, fel pe buasai'r gauaf yn dod i ddweyd ei fod wedi tyneru, ac i ofyn cymod Yn ol yr oedd hafannau o borfa las rhwng creigiau, a'r môr tawel dwfn islaw. Ymlaen wele fynyddoedd a chreigiau mawr, ar ffurf muriau, megis wedi eu codi drwy hud. Ac yr oedd gwenau'r haul yn aros ar flodau gwylltion ochr y ffordd. Ffordd eithaf unig ydyw, yr oedd yn pasio tŷ bychan adfeiliedig o hyd. Yr oedd y tai hyn yn sefyll yn y lleoedd mwyaf dymunol,—dan gysgod craig neu ar lan aber wyllt,—ond y mae eu preswylwyr wedi mudo, mae'n debyg, i'r tai mwd newyddion sy'n codi megis cabanau un-nos, o amgylch Cricieth. Gwelsom un fynedfa adfeiliedig hefyd, gyda'r glaswellt yn prysur orchuddio'r graian, fel pe buasai'n arwain at balas anghyfannedd.

Wrth Fron y Gader, troisom o'r ffordd i lecyn caregog, ac yna i lawr i gyfeiriad y môr. Yr oedd yn boeth orlethol, ac araf iawn y teithiem ymlaen. Cawsom ein hunain mewn morfa hir. Braich o'r môr oedd unwaith, mae'n ddi-ddadl, ond llenwodd rhyw afonig fach brysur y gilfach â daear. Y oedd ffosydd wedi eu torri ar hyd y morfa, ac yr oedd gwair yn ei ystodiau yn sychu'n braf. O ganol y morfa cyfyd bryn bychan, bryn fu'n ynys unwaith, ac ar ben y bryncyn gwelem eglwys ddi-addurn. Dyna

Ynys Cynhaiarn, ac yn ei mynwent y gorwedd Dafydd y Garreg Wen. Cyfeiriasom ati'n araf ar hyd y ffordd las gwmpasog, tra'r oedd y caeau a'r môr yn ymddangos yn gydwastad,—y naill yn wyrdd a'r llall fel arian byw.

Yr oeddym braidd yn lluddedig, ac ni waeth cyfaddef nad oeddym wedi bwriadu dadluddedu yn Ynys Cynhaiarn uwch ben cwpanaid o de. Ond och! Nid oes yn ymyl yr eglwys, nac yn agos, ond beudy to brwyn adfeiliedig. Y mae porth yr eglwys ymron mynd a'i ben iddo, ond y mae rhyw fath o drwsio musgrell wedi bod ar yr eglwys droion. Morwyr ac amaethwyr sy'n gorwedd yn y fynwent. Y mae rhyw Lywelyn Cymreig yn gorwedd yno, a Charreg o Gernyw, a Mac Lean o'r Alban. Gwelsom fedd *pilot* wedi boddi, a gwelsom lawer enw prydferth heblaw Llwyn y Mafon. O'r diwedd, yn un o'r corneli agosaf i'r môr, cawsom y bedd yr oeddym yn chwilio am dano. Carreg las sydd ar y bedd hwnnw, ar ei gorwedd, ychydig yn uwch na'r lleill. Ar ben y garreg y mae llun telyn mewn cylch, ac yna yr ysgrifen hon,—

BEDD DAVID OWEN
*neu Ddafydd y Garreg Wen.*
y Telynor rhagorol
a gladdwyd 1749,
Yn 29 oed.

Swynai'r fron, gwnai'n llon y llu—a'i ganiad,
Oedd ogoniant Cymru;
Dyma lle cadd ei gladdu,
Heb ail o'i fath, Jubal fu.
E. O.

Y mae'r bedd yn un o'r rhai mwyaf dinod ymysg y beddau dinod sy'n llenwi'r fynwent hon; ac oni bai am ofal Elis Owen o Gefn y Meusydd, ni fuasai yno garreg o gwbl. Uwch ben bedd y cerddor saif danadl poethion a checs a llysiau bras, anhyfryd eu harogl. Y mae'r fynwent a'r eglwys yn ddarlun o bethau wedi eu gadael. Y mae'r eglwys wedi ei phlastro drostri, heb neb i ofalu am ei phrydferthwch, ac yn wag. Y mae'r fynwent mor anhrefnus a phe buasai pla wedi difa holl drigolion y fro, ac wedi gadael i'r marw gladdu'r marw.

Eto i gyd, nid ydyw'r fan dawel unig heb brydferthwch. Yr oedd un o honom wedi blino, a rhoddwyd ef i gysgu ar fedd Dafydd y Garreg Wen, a'i glust ar y delyn. A glywodd alawon yn ei gwsg, nis gwn. Cerddasom ninnau, y ddau effro, o amgylch y llannerch gysegredig. Gwelsom mai mynwent bedair-onglog oedd, gyda choed yn estyn eu canghennau drosti. O'i hamgylch y mae'r morfa isel, ac yna cylch o fynyddoedd yn edrych dros y morfa arni. Pan oedd yn ynys, yr oedd yn brydferthach nag ydyw'n awr.

Wedi treulio rhyw awr yn y fynwent, yr oeddym yn effro ein tri, ac yn newynog iawn. Troisom yn ol i'r ffordd, a chyrhaeddasom Bentre'r Felin. Te fynnai dau o honom, byddai'n hawdd cerdded ar ei ol, llaeth fynnai'r llall.

Troisom i dŷ hen ffasiwn a'r enw "Temperance" wrth ben ei ddrws. Tra bo'r tecell yn berwi, buom yn edrych ar lun llongau oedd hyd y mur, ac yn ysgwrsio â'r cwsmeriaid oedd yn dod i'r siop pob peth. Yr oedd y cloc awr yn rhy fuan, yr oedd Beibl a llyfr hymnau ar y bwrdd, ac yr oedd cylch o addurniadau o amgylch carreg y llawr. Gwnaeth y wraig garedig de da, ac nid oedd yn esmwyth heb ganlyn arnom i fwyta'n ddibaid.

Wedi ymgryfhau fel hyn, ail gychwynasom hyd ffordd Porth Madog. Gwelem eglwys Ynys Cynhaiarn ar y gwaelod wedi dringo i fyny bryn ac yna collodd y môr o'n golwg. Teithiasom ymlaen ar hyd y ffordd lychlyd, ac yr oedd yn mynd yn boethach o hyd.

O'r diwedd daeth y lle i droi o'r brif-ffordd i ffordd gwlad. Yna cawsom gysgod hyfryd coed derw bychain, ac yr oedd mantell Fair yn tyfu dan eu cysgod. Arweiniai'r ffordd i fyny o hyd, ac odditanom yr oedd nant,—gwyddem ei bod yno oherwydd ei dwndwr mwyn ac oherwydd fod brenhines y weirglodd yn tyfu uwch ei phen. Cyrhaeddasom ben y golwg, a daethom o'r coed. Yr oedd y tawelwch yn adfywiol anesgrifiadwy, —nid oedd yno ond su pell y môr a sain ambell aderyn mynydd, a gwelem ehedydd yn codi ar ael y goleu. Gwelem gastell Cricieth, a mynydd-oedd Lleyn yn y pellder y tu hwnt iddo. A

gwelem ein ffordd ninnau'n ymdroelli dros y ffriddoedd a'r bryniau, drwy wlad o greigdir, dros y mynyddoedd oedd rhyngom a'r môr. Yr oedd anadlu'r awyr iach yno yn bleser,—yr oedd arogl grug a rhedyn arni. Yr oedd arnom eisiau bwyd er mai newydd fwyta oeddym. Gwyn fyd, ni a dybiem, y bobl sydd yn byw yn y fro iach hon. Holasom y ffordd i'r Garreg Wen yng Ngarth Morthin, ac wedi dringo aml fryn serth cyrhaeddasom eglwys Treflys. Saif yr eglwys fechan hon yng nghanol caeau gwair, heb na thŷ na thwlc yn agos ati, a buom yn crwydro tipyn o'i hamgylch cyn darganfod llwybr troed i fynd ati. Y mae golwg newydd iawn ar yr eglwys ac ar y beddau; yr oedd y fynwent yn debycach i fynwent ar hanner ei gorffen nag i hen un. Gwelais lawer pennill ac englyn tarawiadol. Dyma bennill oddiar fedd merch Braich y Saint,—

"Gorffwysodd, gadawodd yr anial ar ol,
Tu draw i'r Iorddonen y glaniodd;
A'r Iesu dderbyniodd ei hysbryd i'w gôl,
Can's ffyddlon yw'r hwn a addawodd."

Dyma englyn, hefyd, am y Cristion,—

"Os tan y gist mae'r Cristion,—ei ddu fedd
Sydd fel man-blu'n union;
Mae rhyw fwynhad mawr fan hon
Yng nghlyw su engyl Seion."

Dyma sydd ar fedd Bardd Treflys,—

Gu ŵr, rhawg erys ar go'i ragoriaeth,
Cywirdeg ydoedd, caredig odiaeth;
O Seion o'i ol cyfyd swn alaeth,
Am ei llawn noddwr trwm yw Llenyddiaeth,
Am wawr hoffrudd, am air ffraeth—Bardd Treflys
Drwy Eifion erys diderfyn hiraeth.

Y mae'r olygfa o fynwent Treflys yn ogoneddus. Y mae mynyddoedd Lleyn, Arfon, a Meirionnydd yn gylch am dani ac y mae un bwlch yn y cylch, a môr glas pell sydd yn y bwlch hwnnw. Buom yn eistedd ar y llethr, ar gae adlodd, i synnu at yr olygfa, ac ni cheisiaf fi ei darlunio. Daeth dyn heibio, a danghosodd dalcen y Garreg Wen, draw ymhell, dros ddyffryn a gwastadedd.

Yr oedd y dydd yn mynd, a'n ffordd ato'n hir. Aethom i lawr gore gallom hyd y caeau serth i'r Morfa Bychan, lle agored ystormus, gydag ychydig o ddefaid yn blewyna hyd dwmpathau grugog dyfai yma ac acw yn y tywod. Ond dipyn oddiwrth y lan, yr oedd caeau gwastad fel bwrdd, dan wenith tonnog. Wedi taith flin gadawsom y môr, a daethom at lyn ar ochr y ffordd, a lili'r dŵr ar ei ymylon. Oddiwrth y llyn arweiniai ffordd dywodlyd i fyny at dy gwyn ar y fron. Dringasom i fyny, heibio i ffynnon o ddyfroedd clir. Daethom at gefn y tŷ, ac yr oedd geneth fach yn cychwyn i hel y gwartheg.

"Ai hwn ydi'r Garreg Wen?"

"Ie, mae meistres yn y tŷ."

Gyda'r gair daeth gwraig ieuanc i'r drws, a

dywedodd fod croeso ini weld y tŷ. Gwelodd fod yr ieuengaf o honom wedi blino. Daethom yn ffryndiau mawr, ac ni chawsom fwy o groeso yn unlle erioed. Yr oedd y gwartheg yn y fuches, ond cawsom de dan gamp. Yna cawsom weled holl ystafelloedd cartref y telynor. Hen amaethdy clyd ydyw'r Garreg Wen. Tŷ hir ydyw, a'i dalcen i'r graig, yn un uchder llofft. Y mae adeiladau o'i gwmpas bron ym mhob cyfeiriad, a gerddi fel pe ar silffoedd craig, a choed ffrwythau Oddiamgylch tyf gwynwydd a phys llygod a phob blodeuyn gwyllt. A thraw wrth gefn y tŷ y mae craig,—hwyrach mai hon ydyw'r Garreg Wen,—yn cysgodi'r tŷ rhag gwynt yr ystormydd. Yr oeddwn wedi clywed mai wrth garreg ar ben y mynydd y cyfansoddodd Dafydd "Godiad yr Ehedydd." Dywedwyd wrth enethig am ddod gyda fi i ben y caeau i ddangos y garreg. Yr oedd yr olygfa'n ehangu o hyd wrth i ni ddringo o gae i gae, a dyma ddiwedd ysgwrs fu rhwng yr enethig a minne,—

"Fedri di ganu?"

"Medra."

"Fedri di ganu 'Dafydd y Garreg Wen' i mi? Neu 'Godiad yr Ehedydd'?"

Edrychodd y plentyn yn syn arnaf.

"Wyt ti ddim yn dysgu canu yn yr ysgol?"

"Ydw."

"Wyt ti'n dysgu canu Cymraeg?"

"O nag ydw!"

"A ddysgodd neb erioed i ti ganu alawon Dafydd y Garreg Wen, a thithau'n byw yn yr un wlad a fo?"

"Naddo."

"Be fedri di ganu?"

"'Little Ship' a 'Gentle Spring.'"

Yr un dystiolaeth brudd wyf yn gael ymhob man yng Nghymru. Mae cartref enwog yn ymyl y plentyn,—lle cyfieithwyd Gair Duw i'w iaith, lle rhoddwyd ar gân ryw wirionedd wareiddiodd ei gyndadau, lle daliwyd rhyw alaw nefolaidd i buro a diddanu meibion dynion byth mwy,—ond, druan bach, ni ŵyr ef ddim am danynt. Feallai fod ei athraw neu ei athrawes heb fedru ei iaith, ac felly'n hollol anghymwys i'w ddysgu. Feallai, mewn ambell i ran o'r wlad, fod ei athraw yn Gymro, ond rhy anwybodus i ddysgu dim iddo am ei wlad ei hun, ac yn rhy ddi-athrylith i weled gogoniant llenyddiaeth Cymru. Dysgir alawon yn yr ysgolion, ac eto ceir ardaloedd cyfain lle nas gall y plant ganu "Llwyn Onn." Rhaid fod rhyw swyn anghyffredin yn alawon Cymru, yn ogystal ag yn ei hiaith, onide buasai galluoedd Philistaidd y byd hwn wedi eu llethu er's llawer dydd. Y Llywodraeth, yn credu fod yr iaith Gymraeg yn draffeth i'w swyddogion tâl; arolygwyr, wedi rhoddi eu cas ar iaith nas gallant ond ei hanner

siarad; athrawon, wedi dad-ddysgu Cymraeg da wrth ddysgu Saesneg sal,—neu heb fedru erioed ond y Saesneg sal yn unig; goruchwylwyr anwybodus, yn credu fod nef a daear yn agored i'w plant os medrant ddeall Saesneg bratiog porthmyn Caer,—druan o eneidiau plant Cymru rhyngddynt oll.

Cyrhaeddasom y garreg. Carreg fawr ydyw, ar ben cae glas. Dywed yr hanes fod Dafydd yn dod adre o Hafod y Porth ar lasiad y bore. Yr oedd yr haul yn dechre goreuro y mynyddoedd gogoneddus acw, ac yr oedd ehangderoedd y môr yn y golwg. A chododd ehedydd bach uwchlaw'r coed, ac arllwysodd lawenydd y bore mewn cân. Rhoddodd Dafydd ei delyn i lawr wrth y garreg hon, a chyfansoddodd "Godiad yr Ehedydd."

Wedi cyrraedd y Garreg Wen yn ol yr oedd gwahoddiad cynnes i ni aros noson. Ond yr oedd yn rhaid prysuro ymaith. Cerddasom yn brysur tua Phorth Madog, ar hyd rhiwiau lawer. Gwelsom lawer hafan brydferth, ac aml gip ar y Traeth Mawr a Chastell Harlech rhwng y coed. Yr oedd tri yn prysuro trwy ystryd hir Porth Madog, a chyda i ni eistedd yn y tren, yr oeddym yng Nghricieth yn ol. Teimlad dedwydd, wrth gysgu ar lan y môr y noson honno, oedd y teimlad ein bod wedi gweled bedd y telynor ac wedi bod yn y Garreg Wen.

# TYDDEWI.

"Cystal am ofal im yw
Fyned deirgwaith i Fynyw,
A myned, cynired cain,
Ar hafoed hyd yn Rhufain."

IOLO GOCH.

YR oedd wedi taro chwech o'r gloch y bore er ys pymtheng munud neu well pan garlamai ein merlen hoew drwy heol hen Hwlffordd, gan deimlo nad oedd mwy o bwysau yn ein cerbyd ysgafn na phe buasai ddim ond bwcwl addurnedig i gadw'r awenau yn eu lle. Naw o'r gloch y noson cynt, yr oeddwn wedi gadael Llundain a'i chyffro, gan ddisgwyl gweled y bore'n torri ar fynyddoedd Cymru, a chan wybod fod rhyw dawelwch yn gorffwys ar y mynyddoedd hynny, tawelwch iachaol, heddwch a sudda fel balm i enaid y neb a hir edrycho arnynt. Heddwch y mynyddoedd,—dyna feddyginiaeth meddwl pryderus, a dyna adnewydda y corff curiedig fel yr eryr. Aml y teithia enaid Cymro i fynyddoedd ei wlad.

Ar hyd y daith nos bum yn breuddwydio'n anesmwyth yn y tren. Breuddwydiwn ein bod yn chwyrnellu drwy ddinasoedd distaw anghyfannedd,—yr oedd Caerloew wedi ei hanrheithio gan bla, a'r glaswellt yn tyfu ar hyd ei

hystrydoedd; yr oedd Casnewydd dan y môr, a dim ond rhyw drumau aur, fel crib, yn codi o'r tonnau oer brigwynion; yr oedd adfeilion anferth Caer Dydd yn goedwig o eiddew a mieri, a'r môr wedi cilio oddiwrth ei glan. Ond yr oedd edyn aur y bore ar Lyn Nedd ac ar fau Abertawe, er mai prin y medrai'r dydd fy argyhoeddi nad anialwch du oeddwn wedi adael ar fy ol. O wlad y nos i wlad y bore yr oedd fy nhaith.

Nid oedd gennyf ond dwy noswaith a diwrnod i mi fy hun. Rhaid oedd treulio'r ddwy noswaith yn y tren, a mwyn oedd meddwl y cawn dreulio'r diwrnod yn Nyfed, a mynd ar bererindod i Dyddewi. Bu pererinion dirifedi'n cyrchu ar hyd y ffordd hon, yn hen oesoedd cred, tua Thyddewi; oherwydd yr oedd mynd yno deirgwaith mor haeddiannol a phe'r eid dros dir a môr i Rufain ei hun,—ceid yr un gollyngdod am bechod, yr un iechyd corff, yr un heddwch meddwl. Ac i'r neb deithiodd Ddyfed hyd Dyddewi yn nyddiau cynnes hirion esmwyth yr haf, nid anhygoel yw'r traddodiad nad oes afiechyd na gwenwyn na phechod yn trigo yn naear sanctaidd Dewi.

Gwell i mi gyfaddef ar unwaith mai nid marweiddio'r cnawd oedd amcan fy mhererindod, onide buaswn wedi mynd yn y gauaf, a buaswn wedi cerdded dros yr holl fryniau tonnog sy'n

ymestyn rhwng Hwlffordd a Thyddewi. Yr oeddwn wedi deall y byddai un o geffylau goreu'r wlad, ac un o'r gyrrwyr goreu, yn fy aros yng ngorsaf Hwlffordd. Bu'n edifar gennyf droion yn ystod y dydd na fuaswn wedi cerdded; ond, o ran hynny, gorfod i mi gerdded llawer, ac nid o'm bodd.

A dyma ni'n carlamu drwy stryd Hwlffordd. Mor hyfryd ydyw'r cerbyd ysgafn ar ol y tren trwm, ac mor iach ydyw awel y bore dros y bryniau gleision acw. Y union o'n blaenau ymgyfyd castell Hwlffordd, gan wgu i lawr arnom, ac ar yr hen dref ddyddorol yr ydym yn cyflymu drwyddi Toisom ar y dde wrth droed craig y castell, ac aethom drwy ystryd gul ar garlam wyllt, er perygl nid ychydig i'r plant troednoeth coesnoeth oedd yn ymhyfrydu yn y dŵr ac yn y llaid sydd ar hyd ochrau ac ar ganol y Stryd Dywell. Dywedai'r gyrrwr mai ym Mhenfro Seisnig y mae Hwlffordd, ac na siaredir gair o Gymraeg ynddi. Gwelwn yn amlwg oddiwrth enwau'r siopwyr fod llawer cenedl yn trigo yn y dref, Bleddyn Gymreig mewn heddwch â Havard Normanaidd.

Sais oedd y gyrrwr, a charn Sais. Ni wyddai ddim am Arthur, ni chlywodd son am William Havard, ni wyddai ddim am hanes y dref. Sur ac anfoddog oedd ei drem, ac nid oedd ei iaith mor goeth ag iaith ambell un, oherwydd yr oedd

yn rhy hoff o son am drigolion y tywyllwch wrth eu henwau, a mynych gyfeiriad a wnai at ei enaid byw. Ceffylau, cwn, a da pluog oedd hoff destyn ei ymddiddanion; ond am gyfarfodydd pregethu, neu ysgolion y fro, neu ei cholegau, gwyddai lai na dim. Yr oedd ganddo ddaliadau gwleidyddol, ac nid oedd arno gywilydd eu harddel. Yr oedd yn ddyn gonest, yn eithaf caredig, ac yn barod iawn i dystio mai gwir bob gair oedd yr holl ystraeon adroddai.

Dyma ni ar ben y rhiw cyntaf, a gwlad Dyfed hen wlad yr Hud, gwlad chwedl am bagan a sant, yn ymestyn o'n blaenau. Golwg oer a thrist sydd arni, gwlad o fryniau penisel, yn ymestyn fel tonnau tua gorwel y gorllewin, heb fôr yn y golwg, heb fynydd. Ffermwyr, moch, gwyddau, peiriannau lladd gwair,—edrychent am y pruddaf. A thraw, yn hanner cylch o'n blaenau, yr oedd cymylau gwgus yn llawn o wlaw oer. Ceisiai'r gyrrwr fod yn llawen, ond yr oedd amheuaeth yn ei lais wrth iddo ddweyd, —"Cloudy mornin', fine day, sir." Gyda hynny disgynnodd y gwlaw arnom fel pe'i tywelltid o grwc, a chlywn y defnynnau'n rhedeg i lawr rhwng fy nghrys a'm croen. Anodd canu yn y gwlaw, ac eithaf digalon oeddwn innau. Treiai'r gyrrwr fy nghysuro, a thynnu fy sylw at rywbeth oddiwrth fy sefyllfa anghysurus ac anwydog. Danghosodd ddyffryn bychan i mi, a

dywedodd gyda blas ei fod yn lle ardderchog am lwynogod a dyfrgwn. Dywedais innau nad oeddwn yn cymeryd y dyddordeb lleiaf mewn llwynogod na dyfrgwn; ac nad oedd dim casach gennyf na chwn hela, ond y bobl fydd yn eu dilyn Daethom at afonig fechan dryloew, oedd yn rhedeg dros raian glân, dan lwyni o frwyn a llysiau'r gwenyn; ac wrth fy ngweled yn edrych ar y blodau, dywedodd y gyrrwr fod y nant yn lle ardderchog i bysgota brithylliaid, a gofynnodd i mi a oeddwn yn ddaliwr da. Dywedais fy mod wedi dal un brithyll unwaith, a fod yn edifar gennyf byth; ond ni fedrai ddeall hynny. Yr oedd y gwlaw yn dal i ddisgyn, a'm calon innau'n drom. A dechreuodd y gyrrwr ganu, gan wneyd pob swn rhwng swn hogi llif a swn melin goffi. Gofynnodd i mi toc a oeddwn yn hoffi canu, a dywedais innau nad oeddwn wedi clywed canu er ys rai dyddiau. Yr oeddwn yn ddrwg fy hwyl, ac ni phetrusodd y gyrrwr ddweyd gan ba fod y blinid fi.

Ond, gyda hynny, peidiodd y gwlaw, a gwenodd yr haul ar Ddyfed. Siriolodd y ffurfafen, a gwenodd Dyfed arni drwy ei dagrau. Y mae gwên yn disgyn ar rudd brenhines y weirglodd, dacw fynyddoedd a chastell a'r môr, a gallasech glywed dau wlyb yn bloeddio canu dros yr holl wlad. "Dydech chi ddim llawer o ganwr," ebai'r gyrrwr, ar ddiwedd y gân. "Nag wyf," ebe

finnau, "nid ydych chwithau ddim chwaith, y mae fy llais i wedi ei golli o hir ddistawrwydd, a'ch llais chwithau wedi ei andwyo gan ormod siarad."

Castell Roche oedd y castell a welem. Un tŵr sydd o hono, a saif hwn ar drwyn craig sy'n ymwthio i fyny drwy'r garreg galchaidd. Gellir ei weled o bell o bob ochr; y mae'n ddu ac uchel a balch fel gorthrwm, yn gwgu ar holl ddyffrynoedd y wlad hon. Wedi i ni ei adael dywedai'r gyrrwr ein bod yn nesu at y terfyn rhwng Dyfed y Saeson a Dyfed y Cymry, a chefais dipyn o hanes y ddwy genedl ganddo. Nid oedd gwleidyddiaeth Cymry Penfro wrth ei fodd, a gyrrai'n enbyd ar y personiaid am na ddysgent well credo iddynt. Ond dywedai eu bod yn gynnil, yn llwyddiannus, ac yn bobl iach a chryf. Ond anffawd fawr oedd eu bod yn siarad Cymraeg, ac yntau'n deall yr un gair.

Tra'r oedd y gyrrwr yn traethu ei ddoethineb fel hyn, yr oedd golygfa ogoneddus o'n blaenau, —creigiau'n taflu allan o'r ddaear ar y dde i ni, a chastell Roche o hyd; a'r môr, gyda'i benrhynnoedd a'i ynysoedd, ar ein chwith ac o'n blaenau. Cyn hir, disgynasom ar hyd y rhiw at dafarn Niwgel. Y mae hon ar lan y môr; ac yn union ar y terfyn, fe ddywedir, rhwng y wlad Gymraeg a'r wlad Saesneg Yr oeddym ninnau yma ar hanner ein ffordd, ac yr oedd yn rhaid i'r ferlen a'r gyrrwr wrth lymaid. Y mae'r dafarn

mewn lle unig, mewn pantle ar y lan, ac ymron yn anhygyrch yn y gauaf, gallwn feddwl. Ond y mae llawer o gyrchu yno yn yr haf. Pe buaswn yno drannoeth, buaswn yno ar y dydd dawnsio, sef dydd Iau. Y mae traeth o dywod melyn caled gerllaw'r dafarn, a chyrcha bechgyn a genethod yr ardaloedd cylchynol yno ar nawniau Iau i ddawnsio, a daw lluoedd mewn cychod o'r lan gyferbyn i'w cyfarfod.

Wrth i mi ddringo ar hyd y ffordd serth ar ol y ferlen o bantle'r dafarn, gwelwn y traeth prydferth, ac ni welais erioed gymaint cynulleidfa o wylanod y môr a'r dyrfa o honynt oedd yn edrych yn astud ar y llanw'n mynd allan. O hyn i Dyddewi yr oedd y wlad yn dlysach a'r bobl yn fwy dyddorol. Ochrau rhedynog oedd yno, a gwartheg duon,—yn codi hiraeth am y llefrith melus hwnnw na cheir ond gan wartheg sy'n pori ochrau mynyddoedd. Brethyn cartref oedd gwisg y bobl, neu rywbeth ar ei lun,—brethyn da, ffedog stwff, a bectwn yspotiog. Holent fi'n awchus, a methent wybod oddiwrth fy iaith o ba ran o Gymru y deuwn. Gwahoddent fi'n groesawus i'w tai, ond yr oedd yn rhaid i mi gyfeirio eu sylw at y gyrrwr a'i geffyl yn llafurus ddringo'r gorifyny o'm blaen, ac ymron cyrraedd pen y rhiw. Byddai raid i minnau redeg, braidd cyn dechreu'r ymddiddan, i ddal y cerbyd ac i neidio iddo, a rhedai'r ferlen yn

chwim, a'i mwng yn yr awel, hyd nes y deuem at riw drachefn.

Pan ddisgynasom i Solfach, unig sylw'r gyrrwr am y bobl oedd,—"awful radicals." Hafan fach ddymunol sydd yma, ac y mae gwedd gyfoethog a llewyrchus ar bob peth. Tra'r oedd y gyrrwr a'i ferlen yn goblygu i fyny'r rhiw, cefais amser i ysgwrsio â'r fforddolion ddigwyddent fy nghyfarfod. Hoffwn eu Cymraeg yn fawr, yr oedd mor syml a melodaidd; ac yr oedd rhyw ledneisrwydd boneddigaidd ynddynt yn gymysg ag awydd aniwall i siarad.

Ond y mae ein gwynebau ar Dyddewi o'r diwedd. Nid oes bosibl peidio cofio ei hen enw wrth edrych arni,—"Gwlad yr Hud." Y niwl teneu, pellder diderfyn y môr, y creigiau ysgythrog acw,—dyma deilwng gartref i ddefodau erchyll rhyw hen grefydd baganaidd, dyma wlad yr hoffai ysbryd aflonydd rhyw hen forleidr crwydrol aros am ennyd ynddi, ar ryw benrhyn neu ynys sydd eto'n dwyn ei enw. Gwlad hyd a lledrith ydyw, wedi ei gwneyd gan Ddewi yn wlad goleuni'r efengyl. Ond y mae ei swyn a'i phrydferthwch fel erioed.

Arhosodd y cerbyd yng nghanol Tyddewi, a disgynnais i westy cysurus a phrydferth. Wedi cael tamaid,—yr oedd erbyn hyn rhwng naw a deg o'r gloch y boreu,—cerddais ymlaen i gyfeiriad yr eglwys gadeiriol. Ni welir hi nes

dod i'w hymyl, oherwydd mewn pantle y mae. Yna ymegyr ei hardderchowgrwydd o flaen y llygaid synedig. Er fod ol adgyweirio arni, meddyliwn am anialwch mawreddog a phrydferth. Yr oedd rhyw geinder a heddwch rhyfedd wedi gorffwys ar yr hen fangre hanesiol anwyl. Draw heibio'r eglwys y mae palas yr esgob yn adfeilion. Ond na feddylier ei fod yn hagr, er ei fod yn adfeiliedig. Y mae llaw amser wedi rhoddi prydferthwch digymar arno. Y ffenestr gron, y muriau hirion, y llwydni henafol, y wisg iorwg,—ym mha le y ceir adfeilion mor gain mewn glyn mor brydferth?

Rhed aber dryloew o adfeilion y palas, neu o ryw ffynnon rinweddol sydd ynddynt, ac ymdroella dan furmur, fel genethig yn mynd adre o'r capel, drwy'r dyffryn bach tlws tua'r môr. Nid rhosynau na blodau gardd sy'n tyfu yno, ond blodau gwylltion Cymru,—llysiau'r mel a chwilys yr eithin, blodau'r grug a hesg, eithin a rhedyn Mair. Ac y mae'r dyffryn yn ddarlun o brydferthwch a sirioldeb iechyd. A meddyliwn y gellid ddweyd am y blodau eiriau Iolo Goch am offeiriaid Dewi,—

"Engylion nef yng nglan nant."

Yn y pantle hwn, hwyrach, y cododd Dewi Sant ei babell pan ddaeth yn genhadwr i bregethu'r efengyl i baganiaid Dyfed. Ar lan yr aber dlos dryloew, sy'n murmur mor ddedwydd

ag erioed drwy'r adfeilion, y bu Dewi'n cydweddio â'i ddisgyblion am i Grist gael holl Gymru'n eiddo iddo. Ac ychydig feddyliai'r sant yr adeg honno, y mae'n bur sicr, y doi brenhinoedd ar bererindod at ei fedd ac yr edrychid arno fel archesgob holl Gymru. Bum neu chwe chan mlynedd ar ol ei farw, pan oedd ffurf yr eglwys Cristionogol yng Nghymru wedi newid yn ddirfawr, ceisiodd Gerald Gymro brofi fod Eglwys Cymru wedi bod yn un, ac yn anibynnol ar Eglwys Loegr, dan archesgob Tyddewi, olynydd Dewi Sant; a hir y brwydrodd i ailennill i Eglwys Cymru ei hanibyniaeth hwn. Wedi darostwng esgobaethau Cymru dan lywodraeth archesgob Seisnig, ac wedi darostwng Cymru i frenin y Saeson, aeth Tyddewi yn anwylach i'r Cymry o hyd. Pan gododd Glyn Dŵr ei faner, yr oedd yn meddwl am wneyd Tyddewi yn archesgobaeth Cymru, a phrydferth iawn yw darluniad ei fardd Iolo Goch o'r fangre hyfryd. Lecyn prydferth a thawel, y mae gwŷr goreu Cymru wedi bod yn hiraethu am yr iechyd a'r tawelwch geir ynnot. Ynnot ti y gorwedd Dewi Sant a Gerald Gymro a William Morris. A dyma finnau bererin wedi cael edrych ar dy degwch, ar dy draeth euraidd ar dy ffynnon loew, ac ar dy flodau gwylltion.

## NODIADAU.

I.

Tybed fy mod wedi codi awydd ar rywun, yn y dalennau sydd yn y llyfr hwn, i fyned ar bererindod i rai o gartrefi Cymru; neu i grwydro dros fynyddodd anwyl ein gwlad? A yw daear gwlad ein tadau ychydig yn fwy cysegredig i rywun ar ol darllen y peth ysgrifennais?

Ein gwlad ni ydyw. Y mae wedi ei chysegru â hanes ein cenedl. Ynddi hi y gorwedd ein tadau; mae eu beddau'n sancteiddio'i daear, o fedd Owen Gwynedd yn eglwys gadeiriol Bangor i fedd Islwyn ymysg bryniau hyfryd Gwent. Mae cartrefi yma ac acw hyd-ddi, a phlant ynddynt, llawn o fywyd a gobaith, fel y gwroniaid fu ynddynt gynt; onid gwaith da yw dangos i'r plant gyfeiriad camrau y rhai gychwynnodd o'r cartrefi hynny o'u blaen?

II.

Gallu grymus fu gwladgarwch erioed, ac er daioni bob amser. Y mae hunan-aberth ynddo, collir hunan mewn gwlad; y mae ymsancteiddio ynddo,—llosga hunanoldeb fel sofl sych a difa'r hen lid teuluol sy'n chwerwder bywyd barbaraidd, a dug ddyn yn nes at Dduw. Yng ngrym

ei wladgarwch y mae nerth pethau goreu cymeriad dyn; yn erbyn gwladgarwch y mae'r pethau gwaelaf yn ei gymeriad,—awydd am elw, cas at ei gyd-ddyn, rhagfarn. Ai arwydd o ddiffyg gallu mewn gwleidyddwr yw gwladgarwch? Os felly, condemnier Alffred Fawr, y brenin galluocaf fu gan y Saeson erioed? Ai arwydd o wendid meddyliol ydyw? Os felly condemnier Dante, y gŵr o feddwl cawraidd wnaeth i syniadau'r Canol Oesoedd fyw byth.

III.

Cartrefi gwledig Cymru yw yr unig gofgolofnau i arwyr ein hanes ni. Dinod,—anadnabyddus yn aml,—yw eu beddau; nid yw eu gwlad eto wedi codi llawer o gofgolofnau i'w henw, oherwydd tlodi, nid oherwydd diffyg serch. Ond y mae'r cartrefi'n aros. Nid adnabyddir lle bedd Llywelyn na John Penri na Goronwy Owen, ond gwyddom pa le y buont yn chware pan yn blant.

Ni bydd cyfundrefn addysg Cymru'n gyflawn heb amgueddfa genhedlaethol. Nis gwn pryd y daw, ond y mae y bardd wedi ei gweled trwy ffydd.

IV.

"I'r Oriel Wen daw tyrfa lân.
O oes i oes, i wenu'n gu
A'r ddelwau gwyn y dewrion hyn,—

Y tad a'i fab, y fam a'i merch,
Y llanc a'i rian wylaidd rudd,
A'r gwron hen yn fyr ei gam,
A'i ben yn wyn gan flodau hedd,
A'r byd o'i ol a'r nef o'i flaen,
A'i ŵyr bach gwrol yn ei law
A'r byd a'i droion fyrdd i'w gwrdd,—
'Gwel yma, blentyn, dyrfa gain,
Gwroniaid dewr anfonodd Duw.
I fyw a marw er ein mwyn.

CARADOG hwn, yn hawlio'n hyf
Ei serch i'w fwthyn tlawd a'i wlad
O flaen gorseddfainc teyrn y byd.
A llyma LLYWARCH HEN y bardd,
Yn gwyro'n drwm ar faglau pren,
Ag enaid arwr yn ei wedd
Yn gwylio'r rhyd ar fedd ei fab.

Ac wele drindod fu yn dwyn
Yr enw Owen, mwyn ei sain,—
Y cynta'n canu 'i hirlas gorn;
Y llall â llain yn medi'n ddwys
Ym maes Coed Eulo; 'r olaf un,
Gwr hir y glyn, 'a gwaew o dân,
Dyred, dangos dy darian.'
Ab Einion draw yn gwylio'r aig
A thelyn Harlech yn ei law.

Saif yma ddau, O enwau per,—
Llywelyn Fawr wnaeth Gymru'n un;
A'i ŵyr ef, olaf lyw ein gwlad,
Ei fywyd drosti 'n aberth roes,
A chŵyn yr awel fyth ei frad
Ar fryniau Buallt—lleddfus dôn.' "

—R. BRYAN.

V.

Ganwyd Ann Griffiths yn Nolwar Fach, Llanfihangel yng Ngwynfa, yn 1776. Claddwyd hi Awst 12, 1805. Geneth nwyfus, hoff o ymblesera oedd, nes clywodd bregeth gan Benjamin Jones, Pwllheli, yn Llanfyllin. Crwydrodd lawer i gymuno i'r Bala, dros y Berwyn maith unig. Ac onid oes beth o fawredd dieithr y mynyddoedd yn ei chân?

Llyfr bychan dyddorol iawn yw *Cofiant Ann Griffiths*, gan Morris Davies, Bangor. Cynhwysa hefyd ei llythyrau a'i hemynnau; cyhoeddir ef gan Mr. Gee. Dinbych; ei bris yw dau swllt. Dyma ddau ddyfyniad o hono.

"Byddai golwg ddymunol iawn ar y teulu yn Nolwar yn nyddu, a'r hen ŵr yn gardio, ac yn canu carolau a hymnau. Droion ereill, byddai distawrwydd difrifol megis yn teyrnasu yn eu plith. Byddai Ann yn nyddu, a'i Beibl yn agored o'i blaen mewn man cyfleus, fel y gallai gipio adnod i fyny wrth fyned ymlaen â'i gorchwyl heb golli amser. Mi a'i gwelais wrth y droell

mewn myfyrdod dwfn, heb sylwi ar nemawr ddim o'i hamgylch, a'r dagrau yn llifo dros ei gruddiau, lawer gwaith."

"Yn Hydref, 1804, priododd Miss Ann Thomas â Mr. Thomas Griffiths, brawd i'r diweddar Barchedig Evan Griffiths, Ceunant, Meifod. Yr oedd efe yn ŵr ieuanc o deulu parchus, o'r un naws grefyddol a hithau; yr oeddynt hefyd yn agos i'r un oedran, ac yn anwyl iawn o'u gilydd, fel yr oedd eu hundeb priodasol yn cael edrych arno gan eu cyfeillion a'u cydnabod yn un hapus iawn. Daeth efe, ar ol eu priodas, i fyw ati hi i Ddolwar Fechan.

"Ymhen deng mis ar ol priodi, esgorodd Mrs. Griffiths ar ferch, yr hon o'i genedigaeth oedd yn blentyn gwannaidd iawn, a bu farw yn bythefnos oed. Ymadawodd y fam serchog ymhen pythefnos ar ol ei merch fechan, er galar trwm i'w phriod trallodedig, a lliaws mawr o berthynasau a chyfeillion crefyddol."

VI.

Ar ol tynnu'r darlun sydd yn y llyfr hwn, y mae'r Tŷ Coch, hen gartref Ap Fychan, wedi ei dynnu i lawr, ac y mae tŷ newydd ar ganol ei adeiladu. Bum heibio Dan y Castell hefyd ddiwedd yr haf diweddaf; cefais ef ar ei draed, ond heb neb yn byw ynddo. Y mae Castell Carn Dochan uwch ben mor gadarn ag erioed, a hen fro hanesiol Penanlliw mor ramantus.

VII.

Merch Hafod Lwyfog, Bedd Gelert, oedd gwraig Elis Wynn o Lasynys,—Lowri Llwyd wrth ei henw. Hysbyswyd fi na chladdwyd Elis Wynn dan allor eglwys Llanfair. Yr oedd set Glasynys wrth dalcen yr allor, a than honno y claddwyd "Bardd Cwsg." Ond, erbyn heddyw, y mae allor yr eglwys newydd wedi ei hestyn dros y set a thros y bedd.

VIII.

Gresyn fod "Ieuan Gwynedd, ei fywyd a'i lafur, gan Robert Oliver Rees, Dolgellau" mor brin. "Llyfr i bobl ieuainc" ydyw; ac y mae'n un o'r llyfrau mwyaf bendithiol y gall bachgen neu eneth ei ddarllen byth. Y sawl a'i meddo, rhodded fawr bris arno.

IX.

Nis gwn ddim i sicrwydd am Ddewi Sant. Nid wyf yn barod i ddweyd ei fod yn fwy na bod hanner dychmygol, fel Arthur.

X.

Cyflwynir y llyfr hwn i rieni Cymru, lle mae gwaith a serch yn gwneyd y cartref yn lân a sanctaidd; ac i blant Cymru, a gofiant am eu cartrefi anwyl byth.

# GEIRFA.

DEFNYDDIR y llyfr hwn yn llyfr darllen, yn enwedig ar aelwydydd gartref; a gofynnir am eirfa gan lawer o rieni ac athrawon ereill. Yn yr eirfa ferr hon, rhoddir ystyron geiriau na cheir ym mhob geiriadur, a geiriau nas gellir cymeryd yn ganiataol fod pob athraw yn eu gwybod.

Os defnyddir y llyfr i ddysgu Cymraeg, dylid esbonio y geiriau i gyd yn Gymraeg. Y ffordd anhawddaf i ddysgu iaith ydyw trwy ei chyfieithu i iaith arall. Ni ddylid cymeryd y ffordd hon ond pan fo'r disgyblion yn medru'r iaith yn dda.

Yn yr eirfa, defnyddir y talfyriad *s.* am *singular*, a *pl.* am *plural*.

ABERTAWE, Swansea.
ADEN, *wing, side.*
ADFYWIAD, *revival ;* Adfywiad Dysg, *Revival of Learning, Renaissance.*
ADFYWIOL, *reviving, refreshing, invigorating.*
ADLODD, *aftermath.*
ADWY WYNT, *a wind gap.*
ADWYTHIG, *miserable.*
ALLOR, *altar.*
ALLWEDD, agoriad, *key.*
AMHEUTHYN, *luxury.*
ANGHYDMARUS, yn briodol, "anghymharus," *unsuitable.*
ANGHYSBELL, *far.*
ANHYGYRCH, *inaccessible.*
ANWYDOG, *cold, shivering.*
ARDDELIAD, *recognition, blessing.*
ARLLIW, *hue.*
ARUTHREDD, *majesty.*
ASIEDYDD, *carpenter.*

BANADL, *broom ;* banadlen Ffrainc, *laburnum.*
BAS, *shallow.*
BECTWN, o'r Saesneg, "bedgown," *bodice.*
BEDW, *s.* bedwen, *birch trees.*
BEICHIO, *to low, to bellow.*
BEISDON, *beach, strand, shallow.*
BEUDY, *pl.* beudai, *cowhouse.*
BLAWD CEIRCH, *oatmeal.*
BLODAU'R TARANAU, *red campion.*
BLONGO, perthyn, o'r Saesneg "belong," *to be related.*
BONDO, *eaves.*
BRAD, *treason ;* bradwr, *traitor.*

BRAF, *fine*.
BRATIOG, *ragged*.
BRAS, *big*; llian brâs, *coarse cloth*; gwlaw bras, *heavy rain*.
BRENHINES Y WEIRGLODD, *queen of the meadow*.
BRIGAU'R TWYNI, *lady's bed-straw*.
BRITHYLL, *pl.* brithylliaid, *trout*.
BRWMSTAN, *brimstone*.
BRWYN, *rushes*; tŷ tô brwyn, *a rush-thatched house*; canwyll frwyn, a *rush-light*; *s.* brwynen.
BRYNCYN, *hillock*.
BUARTH, *yard, farm yard*.
BWRW, *to throw*; bwrw glaw, *to rain*; bwrw anwyd, "to throw one's cold away," *to warm oneself by exertion*; bwrw eu cyrn, *to cast their horns*.
BYRDEW, *chubby, thickset*.
BYRGYLL, *hazel shrub, hazel brushwood*.
BYRWELLT, *short grass*; lladd y byrwellt, *to mow the short grass*.
BYTHOLWYRDD, *evergreen*.

CADLES, *pl.* cadlesoedd, *rick-yard*.
CAER, *Chester*.
CAERDYDD, *Cardiff*.
CAER GRAWNT, *Cambridge*.
CAERLOEW, *Gloucester*.
CAFN, *trough*.
CÂN, *song*, canu, *to sing*.
CAN, cann, *white*; cannu, *to bleach*; bara cann, *wheaten bread*.
CANLYN ARNOM, *to press us*.
CARDOD, *alms, charity*; yn gardod, *free*.
CARREG LAS, *blue stone, slate*.
CARLAMUS, *galloping*.
CAR MAWN, *turf sledge*.
CARN YR EBOL, *coltsfoot*.
CARN, *arrant, extreme*.
CART ACHAU, *pedigree chart*.
CASNEWYDD, *Newport*.
CEFNEN, *ridge*.
CEI, *quay, embankment*.
CENN, *scales*; cenn cerrig, *lichen*.
CEULAN, *hollow bank*.
CLEFYD, *fever*.
CLERA, *to sojourn as a poet*.
CLONCIOG, *jerky*, ffordd glonciog, *an uneven road*.
CLORON, *potatoes*.
CLYCHAU'R GÔG, *harebells*.
CNAWDOL, *sensuous, sensual*.
CNEC, o'r Saesneg "good neck;" torri yn y gnec, *to cut very short, to cut close*.
CNEIFIO, *to shear*.
CNEIFIEDIG, *shorn*.
CNUL, *knell*.
COCH, *red*; coch gwan, *pale red*; coch-wyrdd, *maroon*.
CODIAD, *rise*; codiad tir, *rising ground*.
COG, cwcw, *cuckoo*; ehed i ffwrdd pan wêl hi wair wedi ei dorri, meddir.
CÔR, *choir*.
CORACH, *dwarf*.
CORN CARW, *broom rape, buckshorn plantain*.
CORNCHWIGLEN, *pl.* cornchwiglod, *plover*.
CORSYDD, *s.* cors, *marshes*.

CRAWCWELLT, *coarse grass, mountain grass.*
CRECHWEN, *laughter.*
CRED, *faith;* gwledydd cred, *Christendom;* oesoedd cred, *Christian times.*
CREGIN, cregyn, *s.* cragen, *shells.*
CRIAFOL, *s.* criafolen, cerddinen, *mountain ash.*
CRIBIN, *hay-rake.*
CRIB Y DONN, *the crest of the wave.*
CRIMELL, *shin; ridge.*
CRYCH, *curly, frosted.*
CRYNWYR, *Quakers.*
CUNOG, *milk pail.*
CURIEDIG, wedi curio, *wasted, afflicted.*
CUT, *hovel;* cut moch, *pigsty;* cutiau Gwyddelod, *prehistoric huts.*
CWERYLGAR, *quarrelsome, querulous.*
CYFAMOD, *covenant.*
CYHYROG, *sinewy.*
CYLL, *s.* collen, *hazel trees.*
CYMUNDEB, *community.*
CYNFFONWYR, *flatterers.*
CYNFFON Y GATH, *reed mace.*
CYNGHANEDDU, *alliterate.*
CYNHAEAFUS, *ripe, ready for harvest, well harvested.*
CYNHEBRWNG, *funeral.*
CYNHEDDFAU, *s.* cynneddf, *nature, endowment, power.*
CYNHYRFUS, *agitated. stormy.*

CHWILYS YR EITHIN, chwerw lys yr eithin, *wood sage.*
CHWIPYN, *instant.*
CHWYRN, *fast, impetuous.*
CHWYRNELLU. *to whirl, to whiz.*
CHWYS MAIR, *crowfoot.*

DANADL POETHION, *nettles.*
DARFODEDIGAETH, *decay, consumption.*
DAS WAIR, *hay-rick;* dasu mawn, *to make a turf rick.*
DEGWM, *tithe;* ffordd tre ddegwm, *a district road.*
DIBYN, *precipice.*
DIFERLLYD, *dropping, leaking.*
DIGYFFRO, *quiet, tranquil.*
DIREIDUS, *mischievous.*
DUWCH, *blackness, darkness.*
DYFALU, *to guess, puzzle, wonder.*
DYFNLAS, *deep blue.*
DYFRGI, *pl.* dyfrgwn, *otter.*
DYLEDSWYDD DEULUAIDD, *family prayers.*
DYRYSNI, *tanglewood, thicket.*

EGIN YD, *young corn.*
EGLWYS GADEIRIOL, *cathedral.*
EHEDYDD, *lark.*
EIDDEW, iorwg, *ivy.*
EILLIO, *to shave;* ellyn, *razor.*
EITHIN, *gorse;* eithinog, *gorse-covered.*
ELEIRCH, *s.* alarch, *swans.*
ENLLYN, *food made out of milk, such as butter, cheese; anything eaten with bread.*
ESGYMUN, o "excommunicate," *banished, forsaken, despised.*

FEIDIOG LAS, *ground ivy.*

FFA'R CORSYDD, *marsh trefoil, buckbean.*
FFEDOG, arffedog, *apron.*

FFIGIWR DAU, *the figure two.*
FFORDD, *road;* ffordd dre ddegwm, *country road, bye-road, district road;* ffordd drol, *cart road;* ffordd fawr, *highway;* ffordd haearn, *railway.*
FFRIDD, *pl.* ffriddoedd, *a hill-side field, a field enclosed from the mountain.*

GALLT, *hillside.*
GARR, *pl.* garrau, *shank;* camedd garr, *the bend of the knee;* "gostwng yn ei garrau," *make a curtsy.*
GLASIAD (*from Eng. glass*), *a glass full;* glasiad y bore (*from Welsh* glas = *blue*), *dawn.*
GLASLANC, *a lad, a raw lad, a callow young man.*
GLASWELLT, gwelltglas, *grass.*
GLASWENWYN, *scabious, devil's bit.*
GLASWYRDD, *pale green.*
GLYN NEDD, *Vale of Neath.*
GOBLYGU, *lean forward.*
GODRE, *fringe.*
GOESGOCH, *crane bill.*
GOLCHEURAID, *wood sanicle.*
GOREURO, *gild, clothe with gold.*
GORLETHOL, *overpowering.*
GORUCHWYLIWR, *land agent.*
GORIFYNY, *uphill.*
GRAENUS, *well-nourished, sleek.*
GREDDFOL, *instinctive.*
GRESYNUS, *pitiful, miserable.*
GRUG, *heather.*
GWÂL, *lair, sty.*
GWALLT Y FORWYN, *maidenhair*
GWASEIDD-DRA, *servility, sycophancy.*
GWAWR, *dawn; colour, shade of colour, tinge, sheen, hue;* gwawr aur, *a gold sheen.*
GWEDDOL, *not excessive.* gweddol wastad, *fairly flat.*
GWEGIL, *nape, back of head.*
GWEIRGLODD, *meadow.*
GWEIRIOG, *full of hay.*
GWELWI, *to pale.*
GWENITHFAEN, *granite.*
GWENOLIAID, *s.* gwennol, *swallows.*
GWENYNEN, *pl.* gwenyn, *bee.*
GWERINIAETH, *republic.*
GWERN, *s.* gwernen, *alder trees.*
GWINGO, *to be restless, to wince.*
GWLAW, yn briodol "glaw," *rain;* gwlithwlaw, *fine rain;* curwlaw, *stormy rain.*
GWRTHFACHOG, *barbed.*
GWYLAN, *gull.*
GWYLNOS, *watchnight.*
GWYLL, *dusk.*
GWYNIAS, *at white heat.*
GWYNWYDD, gwyddfid, *honey-suckle, woodbine.*
GWYS, *summons, writ.*
GWYTHIEN, *pl.* GWYTHIENAU, *vein.*
GYRRU, *to drive;* gyrru ar, *to run down, to revile.*

HAFAN, hafn, *pl.* hafannau, hafnau, *nook, dell.*
HAFOD, *a summer residence, a mountain farmhouse.*
HEDDGEIDWAD, plismon, *police man.*
HEIGIO, *to abound.*
HEISLANOD, cribau gwlan neu lin, *hatchels.*
HELM DROL, *cart house.*
HELYG, *s.* helygen, *willows.*

HEN BRYDNAWN, *late afternoon.*
HESB, *pl.* hesbion, *milkless, dry.*
HESG, *sedge.*
HIRGUL, *long and narrow.*
HOGI LLI, *to sharpen a saw.*
HOGYN, *lad, under servant;* hogyn cadw, *a lad who looks after cattle or sheep in their summer quarters.*
HUD, *spell, magic, witchery.*
HUFEN, *cream.*
HWLFFORDD, *Haverfordwest.*
HWYRBRYD, *supper.*
HYNAFIAETHWYR, *antiquarians.*

IGAM OGAM, *zig zag.*
IND, India; dail yr Ind, *tea.*
IORWG, eiddew, *ivy.*
ISALAW, *bass, base.*
ISEL DÔ, *with a low ceiling.*

LORDIO, *to lord it.*

LLADD, *to kill;* lladd gwair, *to mow hay.*
LLAFRWYN, *bulrushes.*
LLEDNEISRWYDD, *gentleness.*
LLEYGWYR, *laymen.*
LLIDIART, *gate.*
LLIFO, *to dye.*
LLODRAU, *trousers.*
LLUS, *s.* llysen, *bilberries.*
LLWYDREW, *hoarfrost.*
LLYDANFRIG, *with spreading branches.*
LLYFRAU GLEISION, *Blue Books,* meddylir yn gyffredin am yr adroddiadau ar gyflwr addysg yng Nghymru, 1847
LLYGEIDYN O OLEUNI, *a flash of light, a gleam.*
LLYSIAU MEL, *meadow-sweet.*
LLYSIAU'R GWENYN, *balm.*
LLYTHYRAU CARU, *love letters.*

MAFON DUON, mwyar duon, *blackberries.*
MAIR, *Mary;* daw yr enw yn aml yn enwau blodau, fel *Lady* yn Saesneg.
MALDWYN, gwlad Baldwin, *Montgomeryshire.*
MANGOED, *undergrowth.*
MANTELL FAIR, *Lady's Mantle.*
MARWEIDDIO, *deaden, discipline.*
MASARNEN, *pl.* masarn, *maple.*
MAWNEN, *pl.* mawn, *turf;* mawnog, *turbary;* tŷ mawn, *turf house.*
MEILLION, *flowers, clover.*
MELYNWYN, *white tinged with yellow.*
MIERI, *s.* mieren, *brambles.*
MIS BACH, *February.*
MUDO, *to move.*
MURDDYN, *a ruin.*
MWNG, *mane.*
MYGFA, *pl.* mygfeydd, *suffocation.*
MYNACHLOG, *monastery.*

NANT, *pl.* neint *or* nentydd, *rill; dingle.*
NENFWD, *ceiling.*
NOSODD ARNAF, *night fell around me.*

ONNEN, *pl.* ynn, *ash.*

PALAS, yn briodol "plas," *palace.*
PALFF, clamp, *a lump, mass;* palff o ddyn, *a big lusty fellow.*

PALIS, *partition.*
PECAID, *a peckful.*
PENGALED, *knap weed.*
PENFRO, *Pembroke.*
PENTAN, *hob.*
PHYSYGWYR, *physicians, doctors.*
PIGFFYRCH, *hay forks.*
PINWYDD, *s.* pinwydden, *pine trees.*
PISTYLL, *spout, stream.*
PIWS, *puce.*
PLADUR, *scythe;* pladurwr, *mower.*
PLYMEN, *a frozen rill.*
POETHFEL, *burnt gorse.*
POTES LLO, *literally* "calves' food," *something mixed up.*
PRANCIO, *to skip.*
PREN GWELY, *bedstead.*
PYS LLYGOD, *chick pea, vetch.*

RHAID WRTH, *it is necessary.*
RHEDYN, *bracken.*
RHEDYN MAIR, *heath shield fern.*
RHEIBIO, *to bewitch.*
RHEWOGYDD, *frozen streams.*
RHEWYNT, *an icy wind.*
RHIBYN, *a long stretch.*
RHOD, *wheel; the ecliptic;* llwybr yr haul o amgylch y ddaear; "dan y rhod," *under the sun.*
RHODRESWR, *a swaggerer.*
RHOS, *pl.* rhosydd, *moor.*
RHOSYN, *rose;* rhosynaidd, *rosy;* rhosynau gwylltion, *dog-roses.*
RHOI IDDO, *pitch into him.*
RHYDYCHEN, *Oxford.*
RHYGNU, *to scrape.*

SEIAT, o'r Saesneg, "society," *a Church meeting.*
SEIMLYD, *greasy.*
SIARTWYR, *Chartists.*
SISWRN, *scissors.*
SUG, *juice.*
SUOL, *sighing, murmuring.*
SWCH, *ploughshare.*

TAGFA, *pl.* tagfeydd, *a choking.*
TALCEN, *brow,* talcen tŷ, *gable end.*
TANWYDD, *firewood.*
TATWS, *s.* pytaten *or* taten, *potatoes.*
TAWDD, *molten.*
TIPYN, *a little, a small thing, a short time.*
TOLCIOG, *battered, uneven.*
TÔN, *pl.* tonau, *a tune.*
TONN, *pl.* tonnau, *waves;* tonni, *to flow in waves;* tonnog, *wavy, undulating.*
TRAED MOCH, *literally* "pig's feet," *higgledy piggledy, in a jumble.*
TRAWST, *pl.* trawstiau, *beam.*
TRIGLYD, *cold, shivering.*
TROFEYDD, *s.* trofa, *turnings, windings.*
TRUM, *pl.* trumau, *ridge.*
TRYMDER, *heaviness;* trymaidd, *heavy;* gefn trymaidd yr haf, *when summer is at its sultriest.*
TWLC, *hut, hovel.*
TYDDEWI, *St. Davids.*
TYNN, *full, full to bursting, ostentatious, boastful.*
TYNNU, *to draw;* tynnu i fyny, *to walk laboriously uphill.*
TYROG, *round, tower-like, turreted.*

UCHELWR, *a man of rank, gentleman.*

UN UCHDER LLOFFT, *one storey high.*

USTUS, *pl.* ustusiaid, *justice.*

WERYDD, *Atlantic.*

WHITHIG, dull sir Drefaldwyn o ddweyd "chwithig;" *from* chwith—*left; awry, out of order.; a word to express something out of the way in number or size;* "peth chwithig o bethe,"—*very many things. Cf.,* "anferth" Meirion, "budr" Penfro, "ffiaidd" Dinbych, &c.

Y FAGDDU, afagddu, *darkness, hell.*

Y FALL, *Hades, the infernal regions.*

Y FEIDIOG LAS, *ground ivy.*

Y GOESGOCH, *crane bill.*

YMSERCHU, *to love, fall in love.*

YSGAW, *s.* ysgawen, *elder trees.*

YSGETHRIN, *piercing, darting.*

YSGYTHREDD, *ruggedness, wildness.*

YSTYLLEN, astell, *pl.* estyll, *a plank.*

YWEN, *pl.* yw, *yew.*

DIWEDD.



GWRECSAM ARGRAFFWYD GAN HUGHES A'I FAB.